# Y TAD, Y MAB, A'R FERCH.

[*O Saesneg yr Apostol John Taylor, o Ffrainc.*]

Y MAB.

Llon awn i'r gorllewin, i'r hyfryd wlad wiw,
I drigo at bobl fendithiwyd gan Dduw;
Fy nhad, O'm Tad anwyl, dywedwch paham
Na ddewch chwi i'n cludo i'n cartref dinam.
Gwlad, gwlad, hoff, hoff wlad,
Ein Tad, O dewch gyda ni i Seion, hoff wlad.

Y FERCH.

Paham, O 'Nhad anwyl, na ddewch yno i fyw,
Can's Seintiau ddylifant i Seion, medd Duw;
Bendithion nefolaidd yn hael iddi ddug,
A chyda rhai cywir, pur galon, y trig.
Gwlad, gwlad, hoff, hoff wlad,
Ein Tad, O dewch gyda ni i Seion, hoff wlad.

Y TAD.

Blant anwyl, ystyriwch—y daith sydd yn mhell,
A'ch mam sydd yn egwan, a minnau fawr gwell;
Pe trengai, wrth deithio, eich hen fam a'ch tad,
Meddyliech mai gwell fuasai aros 'n ein gwlad.
Gwlad, gwlad, hoff, hoff wlad,
Sef gwlad ein mabandod—'does le fel ein gwlad.

Y MAB.

Ond, 'Nhad, ca'wd dadguddiad gan Dduw am y cwyn
Sydd rhyngddo â Babel, lle magwyd ni'n fwyn;
Daw barnedigaethau trwy'r llwythau yn lli,
A rhag eu holl ddrygau gwnewch ffoi gyda ni.
Gwlad, gwlad, hoff, hoff wlad,
Ein Tad, O dewch gyda ni i Seion, hoff wlad.

Y FERCH.

A thrwy'r holl daith unig, fy Nhad, cymhorth sydd—
Cysuraf a gwyliaf chwi'r nos fel y dydd;
Ac engyl a'ch gwarchad, a'ch cynnal i'r làn,
A Duw a rydd gysur a heddwch i'ch rhan.
Gwlad, gwlad, hoff, hoff wlad,
Ein Tad, O dewch gyda ni i Seion, hoff wlad.

Y TAD, Y MAB, A'R FERCH.

Wel, ynte, cawn fyned i'r wlad dros y môr,
Can's gwell ini'n ddiau yw'r peth drefnodd Iôr;
Cyd-deithio i Seion â'n pwys ar Dduw wnawn,
Cawn wobr y cyfiawn, os ffyddlon parhawn.
Gwlad, gwlad, hoff, hoff wlad,
Ni awn gyda'n gilydd i Seion, ein gwlad.

*Merthyr.* *Cyf.* Benjamin Davies.

Argraffwyd gan J. Davis, Georgetown, Merthyr-Tydfil.